31








IARLES Arglwydd Howard, Barwn o Effingham, marchog or arddercoccaf urdd y Gardys, Goruchel moroedd lywydd Lloegr, Ywerddon, a Chymbru, eu gorwladoedd, au hynysoedd, tref Galis ai hardaloedd, Normandi, Gascoin, a Guines, Pennadur ar foroedd, ac ar frenhinawl lynges ei Mavvredd. At gyfan a chwbl oll or is lywiawd-wyr moroedd, ustusiaid o heddwch, Meiri, Siryfon, Bailiaid, Cwnstabliaid, Toll-wyr, dwfr-failiaid, Personiaid, ficariaid, Curadiaid, wardeniaid eglwys, Cyfran-wyr a Chasgl-wyr tros dlodion, ac at bawb ar y sydd mewn gorisswydd tanynt, ac at oll garedigion, ac usyddion swyddogion, gweinidogion, ac ydeiliaid ein Anrhydeddusaf Frenhines, o ba radd, rhwysc, neu alwedigaeth bynnac y maent o fewn Lloegr, Ywerddon, Tywyssogaeth Gymbru, eu gorwladoedd au hynysoedd, yn gystal o fewn eu braint, ac oddi allan, ac at bob un o honynt Annerch yn ein Harglwydd dduw tragywyddol. Yn gymmaint a bod yr arwein yr godlawd hwn Sion Salisburi (o Wyddel-wern yn sir Feirionydd) yn rhyfel-wr, gwedi gwasanaethu, ac wedi ymroddi yn astud i ddilyn cyfreidiau ei Goruchafiaeth o fewn Ffraingc, Fflandrs, ac ar foroedd Morocus mewn (llong a elwid) Minivvn o Llundain, tros yspait chwe blynedd, a cholli o honaw nerth un oi ddwylaw, a chael yn ei wyneb, ei gorph, ai ysceiriau, un ar ddec o archollion gweledig ac wrth eu hiachau, treulio, a gwarrio o honaw yr ychydig olud a fedde efe ei hun, ar hyn a fedre efe ei gael gan yr eiddo iddo, a chan eraill mewn un modd oll, a thrwy hyny ei ddwyn ef ir fath gyfyngder ac adfyd, fel y mae yn gyffelybol ei lwyr fethu, oddi eithr ei gynnorthwyo ai ymgeleddu drwy waith pobl dda ddefosionol. Drwy ddyfal-ystyried hyn mi a ganiadheais iddo fyng-hanrhaid hon, gan fy mod wedi fy annog drwy dosturi a gressyndod wrth weled ei dlawd ofidus gyflwr, a dull ei fuchedd, fel y mae yn bresennol. Gan hynny, y llythyrau hyn ydynt yn enw Mavvra dd y Frenhines a thrwy ei grasol ai brenhinawl awdurdod, wedi ei chaniadhau, ai rhoddi i mi yn hyn o beth, nid yn unic i orchymyn, peri, ac erchi i chwi, ac i bawb o honoch adel, a dioddef y dywededic Sion Salisburi yn llonydd i ymdeithio, ac i fyned heibio iwch, ac i bawb o honoch, ar bob amser a thymmor cyfaddas o fewn y dywededic wledydd, (drwy ymddwyn o honaw ei hun yn iawn, ac yn weddol, yn ol ei Mawraidd gyfraith) heb lesteir, attaliaeth, cyhuddiad, molest neu flinder: Onid yn hyttrach, yr ydwyf o ewyllys fynghalon, ac yn ddifrifol (o ran Duw) yn dymuno, ac in deisif arnoch, a phawb, o honoch, ir sawl y mae y peth hyn yn perthyn tuag at ymgeledd, a chynhaliaeth y dywededic Sjon Salisburi, ac iw gyfraid ef, yn eich holl eglwysi, ach capeloedd lle y delo efe, neu ei gyfleu-ddyn, ofyn hyn, a chasclu, a chynnull y caredig elusenau, ewyllyscarwch, ac adduned oll gristionawl, a da-amcanawl bobl, a rhoddi hynny iddo, neu iw gyfleu-ddyn, yn gymmorth iddo. Ac hefyd gadel iddo ei hun, neu iw gyfleu-ddyn yn eich dinasoedd, trefydd, pentrefydd, a gwigoedd, a phob man arall lle y delont i geisio, casclu, a derbyn bodlonawl ddefosiwn pob pobl ddaionus (y rhai y try Duw eu calon iw gynnorthwyo ef) heb flinder na thrallod. Drwy gyflawni hyn, diammeu gennif eich bod yn gwneuthur gwaith caredigol ir gwr tlawd. Fing-hanrhaid hon sydd i barhau yspait blwyddyn gyfan ar ol y dydd y scrifennwyd hi, heb ddim pellach. Yr hon a roddwyd yn Llundain yn uchel-freiniol lys yr Admiraliaeth Loegr tann ei Sel fawr yr unfed dydd ar ddec ar hugain, o fis Gorphennaf, yn y flwyddyn o oedran ein Harglwydd Duw 1591. ac yn y xxxiii. flwyddyn o deyrnasiad ein goruchaf Arglwyddes Elizabeth trwy ras Duw, Brenhines o Loegr, Ffraingc ac Yvverddon, ymddeffyn-ferch y ffydd, &c.

Harevvard.

Charles Howard.

Yscrifennwch yn dalgrwn ar gefn hwn, y swm a gascloch, ac enw eich plwyf.

Duw a safo gyd ar Frenhines.

Printed by Thomas Purfoot.

